# ENGLYNION

AR

# FRAD Y POWDR GWN,

TESTYN

EISTEDDFOD LLAN-COLLEN,

*TACHWEDD Y PUMMED, YN Y FLWYDDYN* 1823.



GAN AMRYWIOL AWDWYR.



GWYNDOD-WRYF:

TREFRIW,

*ARGRAFFEDIG GAN JOHN JONES, TROS Y CYHOEDDWYR,*

1823.




## AT Y DARLLENYDD.

*TRWY annogaeth amryw Foneddigion a Beirdd, yn enwedig y Parch. R. B. CLOUGH, Corwen, ac enwog Lywyddion yr Eisteddfod, sef GODFREY LLOYD, Yswain, Llan-Collen fechan, a JOHN WYNNE, Ysw., Glyn Ceiriog, y rhai a fuant yn gefnogwyr ffyddlon i'r achos, yr ydym yn gosod y Cyfansoddiadau canlynol ger gwydd y Cyffredin, y rhai a neilltuwyd fel pigion o'r hyn a anfonwyd atom. Y gwaith a farnwyd yn fwyaf gorchestol oedd a'r enw 'Tydain,' wrtho, yr hwn a arddelwyd gan WILLIAM EDWARDS, Ysgeifiog. Am Englynion ROBERT OWEN, a DAFYDD JONES, nid ydoedd yn oddefol eu rhoddi yn yr ymrysonfa am y gwobr, o herwydd eu bod hwy yn olygwyr ar y gwaith.*

Y CYHOEDDWYR.

# ENGLYNION,

AR

# "Frad y Powdr Gwn."

TESTYN EISTEDDFOD LLANGOLLEN, TACHWEDD

Y PUMMED, 1823.

*Gan William Edwards, Ysgeifiog.*

---

SYLWAF ar achos wylo,——a mynych
Ce's fy mhoeni ganddo;
Coffâd am frâd yn y fro,
Sy rwyg er amser Iago.

Etto er cofio 'r cyfan----llawenu
Oll ynwyf mae f' anian,
Gael dull eu gwaelod allan,
Cyn i'w twyll gael cynneu tân.

Ni bu búdd i Babyddion,----o achos
Dichell **Percy* greulon;
Ni chai drygiog fradog fron,
Wyro gwr Aer y goron.

Dyfais o falais wyw filain,----na bu
Un o'i bath yn Llundain;
Ac na fid cur, tra mur main,
Naws brâd yn Ynys Brydain.

D'ai i'r goleuni 'r drwg alanas----hwn,
A hynod o'r atgas,
Ac amcan, yn gyfan gâs,
Bradwriaeth, bwriad diras.

* *Enw un o'r bradwyr.*

Ni weinyddai un o naddynt----gysur,
O gaswaith cynghorfynt;
Ys oedd Suddas yn gâs gynt,
Mor gâs a Suddas oeddynt.

Di sôn dan dŷ y Senedd----bwriadwyd
Y bradwaith mawr rhyfedd,
Gan Gôr, drwy gyngor drwg wedd,
Drwg herwyr di drugaredd.

Seler oedd îs lawr iddo,----eu cidys
Oedd yn cadw yno,
Drwy glud, gŵn bowdr a glo,
Yn eu dull hyn i dwyllo.

Bwriad dyrys bradorion,----a fferyll
Gwaeth na Pharaoh greulon,
Gael lladdiad, a brathiad bron,
Llwyrach na Chyllill hirion.

Ha! er llunio rhoi 'r *Llwynog----aflesol,
Efo 'i lusern fradog,
Profai hon yn greulon grog
I'r rhai'ny oedd yn rhannog.

Bradwyd a brathwyd Brython,----trwy orchwyl
Tra erchyll y Saeson;
A thra dwys y weithred hon,
Er gwyro Gŵr y Goron.

Byth ar eu hôl bathau y rhai'n----na b'o
Yn y byd mor filain:---
Saeson fry a'r Cymry cain
Fo'n llawndeg fyw yn Llundain.

TYDAIN.

* *Fox, yr hwn a ddarparwyd i danio.*

## ERAILL,

*Gan Huw Jones, Caerlleon, (Erfyl.)*



SIAMAS Frenin, pan siomodd----Babyddion,
Heb eu boddio rywfodd,
Eu du wenwyn a dynodd
Arno, eu gŵg drwg a dro'dd.

A diafol a'u llanwai â dyfais----hyll
Ddichellion a malais;
Uffernol a gwydiol gais,
O amgylch aent a'u hymgais.

Llunien' waith (digllon iawn wedd)----frâd erchyll,
Frŵd orchwyl echrysedd;
Gwneud pen am deyrn a senedd
Mewn mynyd o'r byd i'r bedd!

*Catesbi* mewn asbri ysbryd,----heb arswyd
I *Biersi* 'r un gyngyd,
Hagr fodd! ddadguddiodd i gyd
Ei gynllun daroganllyd.

*Winter* a'i hyfder mawr rhydd,----a *Garnet*
Ag îrnaws hefelydd
A *Guy Ffawkes* o'r un gau ffydd,
Yn gwlwm efo 'u gilydd.

Yr oedd llon'd *Tesmond* o'r tân----ac wyth-deg
Dan gaethder 'r un anian,
Anffodus o'r un ffwdan,
Ynddo o hyd yn ddiwahân.

Eu cynllun (gwrthun y gwaith)----oedd chwythu
Fodd chwithig ar unwaith,
Y senedd---onid syn-waith!
A gwn-lwch----mae'n drwch y draith!

Cloddient, amcanent gael cell----yn union
O dan y senedd-gell,
Ddirgel ëang ddaear-gell,*
Mewn gobaith o wneud gwaith gwell.

Hylosgion† hagrion mewn egrwch----dygent,
A digon o fflam-lwch;‡
Chwe Baril, heb gynnilwch,
Roent chwe gwaith----nid llaith eu llwch.

Cydsyniwyd cadw y senedd----yma
Y pummed o Dachwedd;
Hwn fu'r dwthwn odiaethwedd
Bwriadid rhwygid yr hedd!

Cyn d'ai i ben y dydd enwyd,----y Brâd
Yn brydlawn ddadguddiwyd,
A'i deulu oll fe'u daliwyd;
Eu hunain d'ai 'r rhai'n i'r rhwyd!

Y cas-beth ga'dd wobr cosbawl;----hen Babiaid
Gaent bawb eu cosb haeddawl;
Senedd dang' fu ddiangawl;
Digon mŷg---Duw ga' ein mawl! AP PADARN.

---

## ERAILL,

*Gan John Jones, Llanfyllin.*

CYNFIGEN, fel *Cain* faga----un annuw
Pan yn ei orweddfa,
Pryd trosto iawl, duwiawl da,
Cais ddyfais i'w gas ddifa.

Y *Papistiaid*, haid di hedd----a lanwyd
O elynawl gasedd
At hen *Frydain* gain ei gwedd
Meddylient am ddïaledd.

* *Cellar.* † *Conbustibles.* ‡ *Powder.*

Rhai dall, mall, mŵth, glŵth, rŵth o ryw---gwaedlyd
A gwydlawn fu'r cyfryw;
Odiaeth ryfeddod ydyw
Byth in' fod eu bath yn fyw!

Gwnaent ddewis du-fis, di-dyfiad,----Tachwedd
Er techu eu *Cydfrad;*
Mis tywyll, marw, garw, girad;
Tywyllach, bryntach eu BRAD!

Chwythu SENEDD, chwith wasanaeth!----geisient
A gosod *Pabyddiaeth;*
Di noddi *Duwinyddiaeth,*
A dwyn y gwyr dan iau gaeth.

Tra 'r oedd angau brau mewn brys----a'i ogwydd
At Iago a'r *Ddeu-lŷs,*
Brawdgarwch fflwch, a'i hoff flys,
Ar unwaith gadwai'r *Ynys.*

Ail i Haman hwylio ymaith----gawsant
Ac ysig flin driniaeth;
Yn lle elwch----hyll alaeth
Yr un ddydd, i'w rhan a ddaeth.

Och! och! frâd, an fâd ei fodd,----a dychryn
Yw dechreu ei adrodd!
Pa ffyddlon fron, na frwyniodd?
Awch, a ffriw, pwy na chyffrôdd?

Syn arw, ae gwyr synwyrol,----clau, astud,
A'u clustiau 'n ferwinol!
A phob merch fwyn a serchol,
Gwyllt ae hi a'i gwallt o'i hol.

Helbul oedd trwy wlad *Albion,*----a dyrnu,
A darniaw 'r Bradyddion,
Brathu, cleddu coluddion,
A rhwygaw, a briwiaw bron;

Nid tyrau, bariau, na byllt,----a'u rhwystrent,
Na rhestrawg wyr gwaed-wyllt,
Na gerwin gad-feirch gorwyllt,
Na thyna gâd, na thân gwyllt.

Mil a phummlwydd rhwydd, pan fu brad rhai'n,--oedd
Ein *Hudd*, a deg triugain:
Na ddelo, medd *Cymro* cain,
Y fath *Frad* fyth i Frydain.

HEN GEICEDYN.

## ERAILL,

*Gan Edward Jones, Corwen.*

BRAD y powdr gŵn hwn sy heno,----weithred
Uthr iawn idd ei chofio;
Bwrn *Pabyddion* drawsion dro,
Dygas at ddeiliaid IAGO.

Amcaniad mwya' cynnen----fu erioed
Ar frodir gwlad *Prydwen;*
E fagwyd gan gynfigen,
Ddu oerfawr swydd, ddirfawr sen,

Erchyllgais ddyfais hell ddifawl,----ydoedd
Adwyth tra annynawl;
Gythreulig hyllig hollawl,
Llen oedd ddu yn llawn o ddiawl,

Bwriad mwy anfad mi wn,----ni welwyd
Yn nwylaw plant annwn;
Eilchwaith i Dduw diolchwn,
Yn hael am ragflaenu hwn.

Tybiaf y gwelaf eu gwaith,----yn hwyliaw
Eu helynt anmherffaith;
Brys yrru eu brâs oerwaith,
Er gorphen dyben y daith.

Dywedent mewn modd didawl,----da chwi
Deuwch oll yn wrawl;
Deddyw y nos diweddwn hawl
Y Brenhin a'i wŷr breiniawl.

Awn y'mlaen gyd a'n *Blaenor*,----iaith enwog,
A thaniwn y *pylor;*
A'u muriau ant fel marwor,
Amen, i eigion y môr.

Rhown ddychryn mewn bryn a bro----gryf foddau
Ar grefyddwyr *Seilo;*
O erfawr drais ar fyr dro,
Rhwygwn deyrngadair Iago.----

Arafwch ormeswyr hyfion,----mae un
Mwy enwog na dynion;
A'i gaer o gylch y Goron,
A gwir hawl, na's dryger hon.

Rhywiog lonwech ragluniaeth,----ddewr Fanon,
Ddir fyn ei rheolaeth;
Ni's gwelir un naws galaeth,
O'ch bwriad cudd a'ch brad caeth.

Y dwyll a gafwyd allan----trwy gariad
Tra gwiwrwydd dyn eirian;
Teg y gwaredai rhag tân,
Y' *Senedd,* hynaws anian.

Duw Ior a gadwo 'r goron,----rhag hydwyll
Rwygiadau *Pabyddion;*
Gras, hedd, iechyd, llawnfyd llon,
Tyrred i'n Brenhin tirion.

Glan Afon.



## ERAILL,

*Gan Thomas Edwards, Corwen.*



PABYDDION, aerwon, orwyllt,---a lunient
I lenwi eu drygwyllt;
Echrydus gwydus gwaedwyllt,
Brwd aidd amcanu *Brad* wyllt!

Creulonedd, garedd, gorwyllt,---cynddeiriog,
Molwynog mileinwyllt;
I'r *Seneddwyr*---sann aiddwyllt;
Chwithig wedd a chwythu gwyllt!

Cry' lunient eu creulonedd----yn sydyn,
Rhes, adwyth ddïaledd.
Dadymchweliad i had hedd
Dichwith, *pummed o Dachwedd!*

I'r *Brenin* yr *Ior breiniawl*,——*Swyddogion*
*Sedd Iago*, a'u *rheawl*,
*Diwygwyr*, doethwyr dethawl;
Twrw a hynt tori eu hawl!

Mewn tyb aruthr, uthr, athrist,——sail fanan
Sylfaenu cred *Papist!*
Enghraff o wir nod anghrist,
Diddymu ffydd crefydd Crist !!!

Och! ammeg eu tyb chwimwth,——aruthrawl,
Orchfygawl erch fygwth,
Rhoddi hollt a hollt i'w *bwth*,
Ddwys ammod, yn ddisymwth!

Offeryn sydyn osodwyd,——erchyll,
I'r gorchwyl anhyfryd;
(Gŵyth rhyfedd, gau, uthr hefyd,
Llwyn o wae yn llawn o wyd!)

*Barilau*, mewn byr alwad,——o *bylor*
(Bolwst ganlyniad)
Unarbymtheg--(breg i'w *brad*)
Ar hugain, i wneud rhwygiad!

Mynu llith gwyd---rhith gwaed rhwydd—y *Cymun*,
Cu ammod *sancteiddrwydd*,
A gwneuthur sail gwyn uthr swydd,
I olrain diogelrwydd!

Er llwon hyllion hollawl,——eu *gystlwng*,——
(O! gostrel annuwiawl)
Eginodd hedd gwedd a gwawl,
Cyhoeddiant nwyfiant *nefawl*;

Gwybodaeth helaeth, hylon,——tra gorwych,
Trugaredd Ior cyfion,
Rhoi amlygiad *brad* eu bron
I'r golau eu dirgelion.

Rhown helaeth i'r Ion hylwydd,——mawryddig
Am roddi amlygrwydd,
Ogoniant, rhyglyddiant rhwydd,
Wirglod, am byth i'r ARGLWYDD.——

ARFONA.

---

## ERAILL,

*Gan John Thomas, gynt o Ben y ffordd wen.*

COF am drais, malais milain,——Pabistiaid,
Pawb ystyr eu hadsain;
Cynnwr hyll amcanai 'r rhai'n,
Naws brad i Ynys Brydain.

Y senedd oedd ddwys union——i 'mroddi
Am ryddid Crist'nogion;
Roedd IAGO am hwylio hon,
Nid boddio hen Babyddion.

Hwythau a hwyliai 'n helaeth —fryd awchus
'Fradychu 'r llywodraeth;—
Cadw Brydain gywrain yn gaeth,
A'i boddi mewn Pabyddiaeth.

Unent, ymlusgent i logi,—(bu'n syn)
Senedd yr Arglwyddi;
Mewn seler, o'i hoywder hi,
Dynion roent fflamlwch dani.

Rhoent bylor, di dòr dyrau,—heb oedi,
Bedwar naw o f'rilau
I gyd mewn cell gwedi eu cau,
Neu i gadw dan ffagodau.

Aeth *Guy Ffawkes*, a'i waith gau ffol,—i'w tanio
Y tynai 'n egniol;
Er dyfais Pab na'r diafol,
Dwylaw Nâf a'i daliai 'n ol.

Cychwynodd, heb dân na chanwyll,—nid chwaith
Nod chwithig a byrbwyll,
'N dawel, a'i haearn dywyll,
Dan fantell, dichell o dwyll.

Golosgflwch* nodwch nwydau—y lleidryn,
A lledr am ei goesau;
Yn ei lawgell, hen gell gau,
'Run ffunud dân-reffynau, †

Yn wir, os cofir y cyfan,—callestr,
Gwall astrus ddrwg amcan,
Ac wrth lin neu din y dynan
'Roedd dur tew i daro tân.

Cyn tân y daran dori—i'r eigion,
A rhwygo 'r Arglwyddi,
*Guy* ddaliwyd, nodwyd i ni,
Ac rhagor ga'dd eu crogi.

* *Tinder box.* † *Matches.*

Gwelwn mor addwyn yw rhyddid——'n crefydd
Fo cryfach mewn bywyd,
Ac i'n hiaith hyfaith hefyd
Iesin y b'o oes y byd.

I'n plith bendith fo'n ben,——duwioldeb,
Diwaelder ei helfen,
I'n llwyddo 'mhob dull addien,
A dim mwy onid Amen.                LLWYD.

---

## ERAILL,

*Gan Dafydd ab Ioan, Llan-collen.*

---

DECHREUAD y brâd mewn bro---lonyddol
'N nydd y *Brenin Iago*,
Fu gormesiaid diriaid o
Babyddion, heb eu boddio!

Dyfnion ddichellion (och oedd)---y dynion
Er's deunaw o Fisoedd;
Chwythu, bygylu ar goedd
Yn farwawl faith niferoedd.

Eu dichell brwd du ochi,——llu eiddig,
Oedd lladd a dyfrodi,
A *phylor* anhoff eli,
Gwir iawn, ein goreuon ni.

*Catesby*, a *Persy*, hap oer-sain,——un fryd,
Fu 'n fradwyr drwg milain,
I ledu gwg trwy 'n gwlâd gain,
A llawn-deg senedd Llundain.

O'u plaid, bu diriaid yn darwain——beunydd
I boeni 'r fro urddain:
Brad o frad, brad i Frydain,
Yswyr oll fuasai 'r rhai'n.

*Guy Ffawces*, un eiddig a ffol—oedd elyn,
O ddu-loes uffernol,
Bradwr hen, mewn bryd di r'ol,
I'r 'neiniawg had Brenhinol.

D'ai a Llusern dywell ysol——eglur,
Tân ffaglau brwmstanol,
A'i ufel ias aflesol,
Truan Wr, ni's tröai 'n ol.

Eu dichell drwy hynod achos——gwiw lân
Ragluniaeth wnae 'mddangos:
Arnynt bu chwithig hir-nos,
Aeth yn awr yn eitha' nos !!!

Tri deuddeg (nid tro dyddan)——barilaid
(Bu reolaeth aflan)
O arwaf, hell gyflafan,
Bylor du, i roi 'r bobl ar dân.

Er Addaf ni wnawd arwyddo——ei fath
Hyd fyth na foed etto:
Ni chad un brad o fewn bro
Niwl addoer yn ail iddo!

Brâd, hynod doriad, ystyriwn,——du nych,
Brâd dau wyneb, gwelwn,
Brâd Llewod, a Seirph, od sŵn,
Brâd annoeth brwd o annwn.

Llawn deu-cant, meddant i mi,——a deu-naw,
Dyna sy o flwyddi,
Bu gwyneb Duw, heb gynni,
Yn dal nawdd i'n cenedl ni.

---

## ERAILL,

*Gan Robert Owen, Dinbych.*

PAN gafodd Iago 'r goron,——yn ddilwfr
Meddyliai 'r Pabyddion
Mai cynnal eu hamcanion
Fyddai, o hyd, fryd ei fron.

Ond ef ni fynai y grefydd——hono,
Na'i chynnal, ddoeth lywydd;
Ac o les i'r Eglwysydd,
E roes bob ewyllys rydd.

Ac yn hyn rhyw gynhenau----gelynol
Ga'i lenwi 'u meddyliau;
Llunient frâd, ogwyddiad gau,
A ro'e wastraff i'w rhwystrau.

I'r bwriad anfad a hyll,----y mawrion
Gymerynt ystefyll
Dan y senedd ddi hedd-hwyl,
I'w gorchwyl euog erchyll.

O fôr hwylient farilau,----bedwar naw,
O bowdr i wneud bradau,
Hwn oedd yn y celloedd cau,
I aros dydd blinderau.

Eu dieflig fwriad aflan----(ni wyddai
'R seneddwyr eu hamcan)
Oedd eu difa 'n ddig anian;
Bwriad tra dwys, brad trwy dân.

*Catesby* a *Piercy*, heb hedd,----*Grant*, *Rockwood*,
Geirwon, tragwyllt duedd,
*Guy Fawkes*, *Rigby*, wŷr di wedd,
*Wright*, *Treshan*, yrai 'r trawsedd.

Mawn Elisabth Jane



Ond dylni *Piercy* fu'r pwys----mawr iddynt,
Am roddi arch dradwys,
Rhag cam i ryw wr cymwys,
Dyhuddai'r hell ddichell ddwys.

E ddygwyd i ŵydd Iago----yr annerch
A yrai hwnw iddo;
Yr enwog deyrn roe yno
Orchymyn i'w erlyn o.



Erlyniwyd i'w creulonedd,----a gwelwyd
Gwaith galon y senedd;
Cafwyd hyd, er hyfryd hedd,
I'w dichell ddechreu Dachwedd.

Eu siomi megis Haman,----a gawsant,
Am geisio 'r gyflafan;
Troe 'n oddaith tra anniddan,
A diwedd rhyfedd i'w rhân.

Boed Sior, etifedd coron----hen Frydain,
Heb frad na gelynion;
A chroes i fwriad brad bron,
I'r eithaf, y bo'r Brython.

DIWEDD.

TREFRIW: ARGRAFFEDIG GAN J. JONES.

